# HEN
# GERDDI GWLEIDYDDOL:

**1588-1660.**

***A godwyd o hen lawysgrifau, ac a argreffir yn awr am y waith gyntaf.***


**CAERDYDD.**

—

**1901.**

# RHAGYMADRODD.

Yn y gyfrol fechan hon crynhoir ynghyd, ac argreffir am y waith gyntaf, nifer o ganeuon sydd yn taflu goleuni ar hanes Cymru yn grefyddol ac yn wleidyddol. Gydag un eithriad, perthynant i gyfnod y Chwyldroad Puritanaidd, ac y maent i gyd wedi eu hysgrifenu yn y mesurau rhyddion. Nid ydym yn hawlio lle iddynt o ran eu teilyngdod llenyddol, ond credwn y cyfaddefa efrydydd hanes fod rhyw faint o werth ynddynt o safbwynt yr hanesydd.

Byddai yn hawdd ychwanegu at nifer y cerddi; yn wir, nid yw y rhai argreffir yma ond megys yn cynrychioli dosbarth lled liosog o ganeuon a geir mewn llawysgrifau Cymraeg. Sylwer hefyd fod llawer dosbarth o ysgrifenwyr yn cael eu cynrychioli yn y casgliad hwn: ceir yr offeiriad teyrngar, yr yswain balch, y gwerinwr annysgedig, y gwleidyddwr enllibus, a'r bardd mwyn. Rhyngddynt yr ydym yn lled hyderu y caiff y darllenydd haner awr ddifyr os nad adeiladol.

Yr ydym yn rhoddi'r caneuon gerbron ein darllenwyr yn hollol fel y maent yn y llawysgrifau, heb gwtogi dim. Ar ddiwedd y llyfr ceir nodiadau byrion

ar y cerddi, ond y mae yn ddrwg genym na fuasai yn bosibl rhoi esboniadau llawnach ar amryw faterion dyddorol a geir yn y farddoniaeth.

Os bydd y derbynwyr yn dewis cael cyfrol gyffelyb cyn dwyn y gyfres i ben, y mae digon o hen gerddi gwleidyddol etto ar gael.

# CYNWYSIAD.

I.

## [Can am y waredigaeth a gadd y Brytanieid o law y Spaeniaid cynhennys yn y flwyddyn 1588.]

O Gristnogion brydnerth brŷd
A ddewchwi nghyd yn fedrys
I rhoi moliant i Dduw dâd
Am gadw'n gwlad a'n hynys.

Moses, Debora, Juda clau
A wnaent ganiadau melys
Pan ddinistriwyd ag y llâs
Gelynion câs ein hynys.

Canwn ninnau ganiad rhwydd
I'r unig Arglwydd grasys
Capten, brenin nef a llawr
Am gadw'n awr ein hynys.

Llawer blwyddyn cynllwyn blin
Bu'r Pab a brenin Spaenys
Yn dychymmyg gan eu pwyll
Brad a thwyll i'n hynys.

. . . . . buon hwy ill dau
. . neuthur llongau hwylys
. . yn ynddynt arfau dûr
A meirch a gwyr i'n hynys.

Pan y cawson ffleet ddifêth
A phob rhyw beth yn dacclys
Hwy hwyliyson yn llawn ffrôst
O Spaen i gôst ein hynys.

Daeth wyth ugain llong ynghyd
Llawn milwyr fflid harneisys
Ai holl fwriad oedd, Duw gwyr,
Ar ddifa'n llwyr ein hynys.

Llawer mil a llawer cant
A llawer marsiant fentrys
Oedd yn tybied yn siccr wir
I caent hwy dir ein hynys.

Llawer Spaniard llawer Ffrangc
Dan feddwl prangc anhappys
Oedd yn ymffrostio hyn ar goedd
Mai'n hwy bioedd ein hynys.

A'n brenhines Lloger ffraeth
Pan cas wybodaeth hysbys
Ai holl amcan hwy yn blain
O'r brenhin Spain ai ynys.

Parodd hithau yn ddi-wall
Trwy gyngor call synhwyrys
Ddodi milwyr ym mhob sir
I gadw'n tir a'n hynys.

Arglwydd Howard yr amrel
A'r capten ffel Syr Ffrancys
Hwy bwyntwyd yn dda eu stôr
I gadw'r mor a'r ynys.

Pan gwrddasont y ddwy fflŷd
Mewn awr a phrŷd tramgwyddys
Lle cas Spaen mewn cywilydd fod
Lle enillwyd clod i'n hynys.

Drylliodd Drake eu llongau brâf
Duw rhoes haf ffortennys
Daliwyd Petro ar y dwr
A daeth i'r Tŵr i'n hynys.

Fe gyrrodd hwy tu a Ffraingc
Dan ganu caingc wylofys
Gwnae'n hwy fod ffag yn ffag
A'r Capten Drake o'n hynys.

Yno Duw mewn eirad hynt
Ddanfones gwynt ystormys
Ag i soddwyd llongau llon
Ym min Iwerddon ynys.

Yno treiwyd llawer mil
O'r Spaenis hil gynhennys
Ag i soddwyd llongau mawr
. . daw mwy'n awr i'n hynys.

. . . . chawsont hwy gam rhwydd
. . st ein Harglwydd grasys
. . ddaethont drwy lawn frâd
. . . . 'n gwlad a'n hynys.

. . . . droed oddiar y ffordd
. . . . y nordd drafaelys
Ag yn llefain bawb o'r rhain
Gwae hwy na baen yn eu hynys.

Ag am hyn Gristnogion glan
Rhowch glod ar gan diolchys
I yr unig Frenin nef
Am glywed llef ein hynys.

Pe tycciasai yn ddi-ffael
I'r Spaniaid gael eu gwyllys
Bysai ddynion yn llai rhif
A gwaed yn llif yn yr ynys.

Ag yn wae i'r dynion hên
A llawer gwên uchneidys
A'r holl blant dan nottarn brynt
Yn flin eu hynt yn yr ynys.

Pob rhyw gristion, gwyllt a dof
Sy berchen cof deallys
Gwragedd, merched peraidd pur
A phlant a gwyr o'r ynys.

Gedwch i ni ym mhôb gwlad
Foliannu'n tad yn fedrys
A rhoi moliant byth i Dduw
Am gadw'n fyw ein hynys.

Ni adawsai'r Spaeniaid draw
Mae hyn yn fraw echrydys
Uwchlaw saith mlwydd o un râdd
Un dyn heb ladd yn yr ynys.

Pwyswch i weddio nghyd
Yn awr mai'n fyd peryglys
Gormodd fradwyr hyn sydd chwith
Medd rhai sy'n plith yn yr ynys.

Duw nâd iddynt gelu eu rhin
Y bleiddiaid blin twyllodrys
Onid mŷsg yn llwyr eu nyth
A chadw byth ein hynys.

O daw gofyn ar ai gwnaeth
Periglor ffraeth madroddys
Sy'n gweddio yn ddi-drist
Dros Eglwys Grist ai ynys.

A'n brenhines brydnerth brydd
Dra doniog ddedwydd ddawnys
Duw rhoddo i hon enioes hir
I gadw tir ein hynys.

THOMAS JONES,
*Person Llanfair yn Sir Fynwy ai cant.*

## II.

### [Hiraeth merch am ei chariad a ymladde o blaid y Brenin.]

Tan ben y fronn fregys mae trwblys glwy caeth
Hiraythy, gofaly fynwylyd ai gwnaeth
Nid oes geni o gysyr im lester i'r llawr,
Ond cofio am fy 'nwylyd bob mynyd yn 'r awr.

Ar hynn rhwi rhoi yn gwethi heb dewi bob dydd
O wllys fy ngalon, yn ffyddlon fy ffydd
Ar gadw Dduw yngornet i ochel 'n gall
Gwmpeini 'r pengrynion cymdithion y fall.

Wrth weled yn briddion gymdithion bob dydd
Hynny sy yn peri fynghalon mor brydd
Dim nes nid wy i i sirio er siarad yr un
Nes caffel cwmpeinie fynghornet fy hun.

Trwm oedd y ffarwel heb gownsel ag e
Heb gaffell ond unweth wybodeth i ble
Y ciliodd fynwylyd rhag gwnfyd i gas
Na rotho Duw uthun futhronyn o ras.

Gan hireth a galar anglayar iw ynglwy
Nes gweled i wndal diofal nid wy
Ne yrru om gwir galon arwiddion di fraw
Ne rothi i mi gysyr trwi lythyr oi law.

Nhw yrrasson fynhwylyd ni wn i amcan i ble
Nad elo byth rowndhead o honyn i'r ne
Morr ddierth i bython i'r cyfion Dduw tri
Ag ydi fynhwylyd y rowrran i mi.

Os gorfu fo rwan fynd allan oi fro
A myned tros amser i riwle i roi tro
Pei cowse fo i wllys foi gwnaethe nw u . . . .
I elynion pyr boithion ne beth yn sp . . . .

Y cafeleers mwynion sydd ffyddlon a ffyr
Ai wllys yn ddilis i ddeilio fel gwyr
Anwythe'r traytyrried a dorodd i gair
Cwckwaldied, bastardied, gylynied Mab Mair.

Ni fedrwn ddyfalu monyn nhw byth
Ond ir cakwnied cyrnonllyd i nyth
Yr hain pyn godason oi dayar ai llwch
Y gwenyn diniwed y gyred ir cwch.

Maen nhw'n cael rowran y cwr yma ir byd
Y meal ar cyrwubyr ar cwbwl i gyd
Bydd siwr i daw garwedd i'w gyru nhw ai brad
I'r llawr fel i byon yn waylion i stad.

Duw a nel imi gael clowed cunn gweled y gog
Bob rowndhead o honyn wrth dennyn yngrog
Ag yno ar i afrad ai marchnad o ddryd
Mi a dala am i bara o bytha yn y byd.

Ag yno ceir gweled pob dyn 'n gyttynn
Ann brenin cywithas i dernas i hyn
A mine mia'm cornet yn llawen fy myd
Ar holl geare ar offer yn yffern i gyd.

Ar hyn rhwi roi yngweddi ar f' Arglwydd Dduw tad
Na botho byth rowndhead yn hilio mon gwlad
Trwi iechid a hawddfyd a heddwch yn gleer
I gwelwi fy nghornet a fob cafeleer.

Os happie fod gofyn 'n un man pwy gwnaeth
Merch fregys i chalon ai dwyfron yn gaeth
Ni chwenych hi dreythu moi henw i'r un
*On*d rwngthi yn gyfrinach ai chornet i hun.

III.

## [Can i yrru'r Gath ar neges drwy Sir Feirionydd.]

Fy nitw fwunaidd anian
A fegais er yn fechan
A wnai ddim dan foel y garth
Ond mynd or barth ir gellan.

Mae yn llymion iawn dy gribau
Mae yn ystwuth dy gymale
Ystwuth yw dy droed ar dir
Ath farfan hir flewynnau.

Adara yn fwun a fedri
O doi di i dewion berthi
Pyscodyn ir yn ymborth gwuch
Ath droed yn such a geri.

Ti a wuddost nid raid unon
Pa farf a lyfi yn diron
Ti a fedri ochel y farf fawr
Su yn tario yn llawr Ydernion.

Mae yn raid iti nag ymdrech
Fy archiad na wrthnebech
Fynd yn genad i le pell
At raglaw Castell Harlech.

Hwi dos y fordd ir archa
At weddw lan or fwuna
Y Riw Goch iw pen dy daith
Yr ai di yr noswaith gynta.

Pan gaffech lefrith ddigon
I lenwi dy golluddion
Tranoeth cychwin or Riw Goch
I Gwm y Moch yn inion.

Ag yno dan ymwarndo
Oth flaen oth ol ysbio
O gweli ddyn cais waelod fos
Nes bod y nos ith guddio.

Tra bytho 'r dydd yn ole
Carlamna dros y pylle
I gael ymborth gwen i phryd
Llygotta ryd y creigie.

Ag yno cerdd yn ddichlin
Trwy ganol drain ag eithin
Ryd Garnialwm gynffon frech
A thros y llech i'r felin.

Oddiyno raid ut gyrchu
A Gastell Merion Cymru
Carlamma ymhell ar naid ystont
A nidia 'r Bont i fynu.

Ti ai rwng y milwyr arfog
Ar draws y from garegog
Ni waeth itti'r nos na 'r dydd
Am hyny na fydd ofnog.

Pan ddelych, dittw burwen
Ymhlith y teulu llawen
Chwilia ymlaen o gam i gam
At welu William Owen.

Dwg iddo vil o annerchion
A gweddi bur o'r galon
Oddiwrth i fi fynghettun gwâr
A phawb a gar y goron.

Fyngwedd i bawb o honyn
Dwg yn enwedig gettun
Tra fo dant ynghil fy moch
At Robin goch orchymyn.

A dowaid y newyddion
Y modd i maer ymryson
Rwng gwyr Lloegyr or naill blaid
Ar Yscotiaid feilsion.

O mynni hefyd dowaid
Y gwir ir cowir ddelied
Mal i nillwud Dulun gron
Ar Werddon gan Babistiaid.

Di elli hefyd ddatcan
Y newydd nid iw fychan
Yr ymrafel rwng dwy fydd
Su yn re Caer ludd yrowan.

Un Duw oi fawr drigaredd
A roddo i wir dyngnefedd
I ni ar yr udcorn lef
A gwen wlad nef in diwedd.

ROLANT VYCHAN,
*o Gaer Gai ai kant.*

## IV.

## [Ymddiddan rhwng Mr. John Griffith, Llanddyfnan, a'i ewythr, Mr. Bwlclai, yn 1647.]

*J.G.* D'wedwch f'ewyrth call gyfyrdo
A ath y planed erwin heibio?
A ddaw pen ar ddyddiau blinion?
A ddaw byth y byd a welson?

*B.* Fy nai anwyl chwi'm holasoch
A ddaw hynn a'r llall chwi wyddoch
Digofaint Duw a wnaeth yr holi
A chymmod Duw: rwy'n atteb i chwi.

Digofaint Duw oedd ffrwyth y planed
Nid aeth hi heibio er ei garwed:
Ni ddaw pen ar ddyddiau cystudd
Nes cael cymmod Duw o newydd.

*J.G.* A ddaw'r Brenin i'w gyfiawnder?
A ddaw'r Eglwys i'w hen arfer?
A ddaw'r Deyrnas yn heddychlon?
A ddaw byth y byd a welson?

*B.* Ni ddaw Heddwch i'r teyrnasau
Ni ddaw'r Eglwys i'w hiawn ddeddfau
Ni ddaw'r Brenin yn ben llywydd
Nes cael cymmod Duw o newydd.

*J.G.* A ddaw diwedd ar y rhyfel?
A ddaw taflu'r gynnen i'r gornel?
A ddaw rhwd ar arfau gwnnion?
A ddaw byth y byd a welson?

*B.* Ni ddaw diwedd ar ryfelu
Ni ddaw taflu'r arfau i rydu
Ni ddaw ffrwyth ar goed y meusydd
Nes cael cymmod Duw o newydd.

*J.G.* A ddaw peidio a threthy'r gweiniaid?
A ddaw diben ar estronniaid?
A ddaw cael yr hen swyddogion?
A ddaw byth y byd a welson?

*B.* Ni bydd gweiniaid heb ei threthu
Nag estronniad heb orthrechu
Ni bydd swyddogion hen yn unswydd
Nes cael cymmod Duw o newydd.

*J.G.* A ddaw codiad i'r hen gyfraith?
A ddaw'r capten yn grydd eilwaith?
A ddaw parch i bendefigion?
A ddaw byth y byd a welson?

*B.* Ni ddaw'n barchus y penaethiaid
Ni ddaw'r gyfraith hen i'r deiliaid
Ni ddaw'r capten yn gobler-grydd
Nes cael cymmod Duw o newydd.

*J.G.* A ddaw rhyddid a llawenydd?
A ddaw pawb yn ddeiliaid ufydd?
A ddaw undeb rhwng Cristnogion?
A ddaw byth y byd a welson?

*B.* Ni ddaw deiliaid i ffyddlondeb
Ni ddaw rhwng Cristnogion undeb
Ni ddaw rhyddid na llawenydd
Nes cael cymmod Duw o newydd.

*J.G.* Tra fo'r brenin mewn caeth garchar
Tra fo'r escobion llynn ar wascar
Tra fo o scum y byd swyddogion
Ni ddaw byth y byd a welson.

## V.

## A Song made on ye ransacking ye country in ye time of Oliver Cromwell's Protectorship.

*To ye tune of "King shall enjoy his own again."*

BY JOHN GRIFFITH ESQ. OF LLANDDYFNAN.

Fe aeth y ddaear gron 'n graith
Nid rhaid mwy mor talu am waith
Y mae'r gweision bob yn fil
A'r morwynion yn i sgil
A ffawb ai stad ar gost y wlad
Yn rheoli yn anian draws
Dau gwell i hynt nai meistred gynt
Mae nhw 'n gweled hynny'n haws.

Y mae'r Dyrnwr truan prydd
A ddyrne gynt am ddime'r dydd
Wedi taflu'r ffust i bell
A'r *rapier* fain yn nrws y gell
The ffŵg, the ffhâg heb ddim Cymraeg
Ond cornelu gwrachan hen
Dan dyngu'n dost y myn gig rhost
Ag onide fo dynne i gên.

Y mae'r brettyn Bigail moch
Yn i Sgarph ai Sgarlet coch
Ag yn tyngu ofer lw
Na ddaw'n i go, si ha, si hw
Ai hanger gam fo ladda i fam
Am ddwy geiniog heb ddim chwyth
Gwae esgyrn pen 'r hen iâr wen
Fo i difetha hi ar i nyth.

Y mae'r Gof ar siecced lom
Fu'n sychu traed y meirch o'r dom
Ai ddau lygad fal y tân
Yn bygwth lladd i ostes lân
Moes im dybac a diod 'n frac
Tyrd ag arian chwip imi
Ond te, myn diawl, mi dafla'r cawl
Am ben cyrn dy gycwallt di.

Y mae'r Gwŷdd, seimlyd i din
Ai farclodun croenyn crin
A fu gynt yn wael i stad
Yn dwyn melldith gwragedd gwlad
Ni chae o byth moi wal o sŷth
I wneuthur brwchan da ar i les
Mae ai gledde o hyd a'i fwtias clyd
Yn lle gwenol, pustol pres.

Y mae'r Pannwr troed-traws trwm
A fu gynt yn cneifio'n llwm
Ag a gweirie glyttun glas
I hen wrach o frethyn bras
*Roaring Beau* fal Iarll mae o
. . . . rwan myn fy ffydd
'R *arrant rogue* sy'n gwisgo clog
Fu gynt yn lleidryn fal y gwŷdd.

Y mae'r Taeliwr, *Simple Sue*
A fu'n siftio am fodd i fyw
Ai nodwydd ddur ai ede lin
Fe roe glyttyn ar ych glin
Fe drwsia hwrdd cin mynd i ffwrdd
Ar gwd halen gwraig y ty
Fo gneifie'r ci os mynne hi
Mae'n awr mewn sute o satin du.

Mae'r Melinydd gwydyn glew
A fu'n bwyta'r deisen dew
Fo fynne iair a chowion rai
A stiwie rhain mewn menyn Mai
Ai bedwar gwas mewn sidan glas
Yn i sgarffiau au penna noeth
Ni ddwg o mwy mo flawd y plwy
Ni phis o byth ar bensyth poeth.

Y mae'r Eurych brebwl brith
A fwyttae'r toes a'r llith
Ai farclod croen o lin hyd en
A gweirie gwman crochan hen
Yn awr mae'r cnaf fal blode haf
A gwalld arglwydd ar i ben
Nid co moi fod yn cario cod
O groen hwch a thalcen pren.

Y mae'r dyn a'r wyneb bwch
A fu'n disbaddu'r ast a'r hwch
Ai gorn siol ai feiol fud
Yn galw'r geist a'r moch ynghyd
Ai wreigen ffraeth a gweirie'r gath
Ag ai gwranta ganol ha'
Y mae o'n awr mewn *office* fawr
A hithe'n *Leger Lady* dda.

Y mae'r dyn a'r dillad crwyn
A fu'n cario'r nod coch mwyn
Pedwar sort mewn congol sach
A gaech-hi gantho am geiniog fach
Ai garreg goch hi node foch
Os cae o letty a charthan lan
Yn awr ni fyn ond Holand gwyn
Ni chyd ddwg a naws y gwlan.

Y mae'r Barbwr cryno bach
Ai walld mawr ai wegil crach
A fu gynt yn iwsio arf
Am geiniog goch i dorri barf
Y mae o'n awr 'n byw fal cawr
A sidan gwych yn cuddio i din
Yn wr mewn parch ar gefn i farch
Yn gweiddi "Ostes, llenwch win."

Y mae'r Cobleryn a fu gynt
Yn clytio esgidie fal y gwynt
A than hogi'r gyllell gam
Yn gosod allan ymbell fram
Yn awr mae hwn yn handlio gwn
Ai gledde gwylld yn taro gwaed
Ond gwell y gwyr oddiwrth wrych a chwyr
Mynwydydd, hoelion, prennau traed.

Y mae'r Cowper cylche brwnt
A sbwyliodd lawer stên a stwnt
A hwn i arfer oedd erioed
Lledrata beunydd ffynn o goed
Yn awr mae'r gwalch 'n ddigon balch
Yn holldi fal y fellden fawr
Os doir i hyd i'r burgyn drud
Fe geiff etto i ddwyn i lawr.

Y mae'r Sglater noethlwm crin
A chwrae hyd ysdol hwp y din
Ag ai llosge weithie a chalch
Yn awr mae'r rôg 'n ddigon balch
Mae mor hy'n ucha'n ty
Ag yn Arglwydd ymhob man
Ag oni cheiff, yn siwr fe wneiff
Ormod drwg mewn tre a llan.

Y mae'r Sadler eger iawn
A stwffia gynt banele'n llawn
Ag a hoeliai grwper crin
I lawer hen sied wrth i thin
'Nawr mae'n Sgwîr 'n yfed bîr
Ag yn dwrdio hen a gwan
Yr *Errant Knave* sydd cadpen *brave*
Yn llywodraethu ymhob man.

Y mae'r Glwfar gwlyb a sych
Yn lledu i draed fal marchog gwych
A fu'n hel rhyw grwyn o'r blaen
Ag ni thale'r lliprin ddraen
Yn awr mae syr yn fawr i *stir*
Yn rheoli tre a gwlad
Ond fe all y cnaf cin diwedd haf
Fod yn gwerthu'r crwyn 'n rhad.

Y mae'r Barker melyn mwyn
A fu gynt yn cweirio crwyn
Ag yn tynnu cynrhon mawr
Or crwyniach drewllyd hyd y llawr
Mae hwn oi go yn gweiddi Ho
Ymgrymed pobol dan y nhraed
Ag onide cyn mynd o'r dre
Mi lenwa'r stryd o gig a gwaed.

Y mae'r Cwriwr berre brain
Fu gynt yn hoffi'r ddiod fain
Yn awr mae'n yfed gwin a *sack*
Ni lefys undyn ddwedyd *Quack*
Y mae'r *spark* yn cadw *park*
A chantho geirw lawer un
Mae'r *noble sir* ai *fan* ai *fur*
Ai *rapier* feindlws wrth i glun.

Y mae'r Cigydd budur baw
A fu a chyllell noeth mewn llaw
Yn awr mae gantho gledde gwych
Yn desgeinio fal y drych
Yn gweiddi pwy sy yn y plwy
A chantho aur ag arian stor
Yn ddigon saf mi yrra'r knave
Ymhell oddiyma dros y mor.

Y mae'r Tafarnwr cwrw drwg
A blas brwnt a sawyr mwg
A fydde'n meddwi lawer nos
Ag yn diwyno llond i glôs
Yn esmwyth hwn sy'n cockio gwn
Ag yn ddigon drwg i gwrs
Mi ai 'dwaenwn gynt yn sal i hynt
Heb un geiniog yn i bwrs.

Y mae'r Tapstr egr iawn
A lenwa ymbell bott yn llawn
Ag a reda fal y mwg
I dderbyn llawer cyfri drwg
Mae'r lliprin gwael yn farchog hael
A chantho ffwtman wrth ei draed
Ag iddo os oes a rydd air croes
Ni wneiff o lai na thywallt gwaed.

Y mae'r Pedler hangman hir
A fu 'n cogio'r pedair sir
Ag yn gwerthu yma a thraw
Ryw hen wâr na thalant faw
Yn awr mae'r slaf yn gowrtiwr braf
Er bod gynt hamper ar ei gefn
Fal swagriwr blin mae wrth ei din
Hanger loyw lydan lefn.

Y mae'r Ffeltiwr wyneb prudd
A goda gynt ddwy awr cyn dydd
Ag a brynna bwys o wlan
I wneuthur hettie i blantos mân
Mae fo'n Syr John yn handlio ffon
Yn gyrru'r sawdwyr yma a thraw
Ag medde'r cnâ, myn ci mi wna
I chwi wybod pwys fy llaw.

Y mae'r Saer cerrig grysbas goch
A weithiodd lawer cwt i'r moch
A phob beudy a fae drwg
Fo'i gwna fo i fynu fal y mwg
'Nawr gan y dyn mae wrth ei glun
Hanger fawr o burion ddur
Ag ar ei ful yn erthyl cul
Yn cymandio mil o wyr.

Y mae'r cerpyn o Saer coed
Heddyw'n haela dyn erioed
A fu gynt yn ddigon hy
Yn dringo i fynu i ben y ty.
Yn awr mae'r gwr yn ddigon siwr
Ni lefus undyn ddoedyd cwecc
Ond fo alle geill hwn fal y lleill
Gael ei grogi "*by the neck.*"

Y mae'r llongwr wyneb crych
A yfa gwrw fal yr ych
A fydde yn dringo weithie i gyrt
Ond ar y tir nid oedd ond hyrt
Yn awr mae'r flas yn feistr blâs
Yn cario ei long o Ffraingc i Spaen
A gwn ei fod ag aur mewn côd
Ond gynt ni thale'r lliprin ddraen.

Y mae'r Glassiwr meddw ei ben
A spwyliodd lawer ffenestr wen
Yn lle bwyall, feis a phlwm
Mae gantho god ag aur yn drwm
A chan y Rog mae scarlet glog
A chledde gloyw llydan mawr
Os doediff un air wrth y dyn
Fo'i teru'n sydyn hyd at y llawr.

Y mae'r Crythor garw mawr
A grafe am geiniog bedair awr
Ag a gane gaingc yn rhad
Yn ufudd i langcesi'r wlad
Yn awr mae'n Sgwir yn yfed bir
Heb ymorol am y crwth
Mae gantho blas a llawer gwas
Er bod gynt yn sal ei fwth.

Nhw aethont oll ar feirch ar draed
I ofer dyngu cig a gwaed
Ag i feddianu gwlyb a sych
Ni cheiff y gwirion godi ei glych
Fo aeth caib y gwas yn gledde glas
Ar ei glun mewn gasel groen
Fe wyr y byd na fwytu brŷd
Heb naill ai capwl drud ai oen.

## VI.

### [Can i'r Amseroedd blin.]

Kewch glowed yr owan fel hannes y twrstan
Fel i rwi'n kwyfan 'n kanfod y byd
Ag fel i mae'r bobloedd ar dir ag ar foroedd
Ryfeloedd a miloedd o meylyd.

Os happia i mi ymddiddan am llyfr fy hynan
Y nos wrth y pentan yn rhyfan mi ai rho
Mi ai kadwa heb ddarllen nes gweled fy machen
Nid an nhw att un ploden i'w pledio.

Fo feider pob catffwll examnio fy meddwl
Mwy malais y mwdwl na madyn
Fo bledia ryw eror heb ddysku moi gwyddor
A rhaid yn rhoi ragor i rogyn.

Os dwedai fynghredo a nemor 'n gwrando
Bydd llawer i'm beio drw ymgyro ar gwynt
Nam pader diwegi, sy ben ar bob gweddi
Heb gannun 'n holi rhyw helynt.

Mae rhai 'n pregethu ni fynnan hwy blygu
'N ufudd i'r Iessu rassol Ddyw ner
Ar llall 'n i grefydd cyn wanned i 'menydd
Ni fynn o na bedydd na'i bader.

Mae rhai gida'r Doctor ai bwlpud ai allor
Lle-i dyle fo i ragor i'r Eglwus 'n shwr
Ag ar llall ai gwestiwn cyn ddoethed a barwn
Mae gwell ydyw opiniwn y panwr.

Esglyso a phob dirmig 'r Eglwys Gatholig
Ar Doctor dyskedig etholedig lên
A mynd i'r esgobtu ar plas wrth y pandu
I ddysku pregethu prygothen.

Troi heibio 'r klydigeth a llyffr gwsaneth
Ar bedydd fam odieth ar unwaith ar ol
Rhoi catffwl i shiarad ynghanol y farchnad
Bygynad a rhyad y rheol.

Esgybo'r esgobied a dysk y doctoried
Meistred, curadied ar redeg
A thade'r Eglwisi, rhoi anair i rheini
A choethi fyth inni ffrythoneg.

Ar lleill 'n wrthnysig i'r gwilion parchedig
A bwrw'r Nadolig or ddiwig i bu
Ar gwragedd mor syfrdan y dyddie sy y rowan
Ar amkan nhw goethan bregethu.

Mae 'r dall 'n pregethu weithredoedd 'r Iessu
Ar bobol 'n teyrru oi ddautu 'n oer wedd
'N wrestio yr yskythur a beible 'n bybyr
'N brysur ai fesur ar fysedd.

A nine 'r kyffredyn fel bagad o wenyn
A fydd 'n i galyn heb ronyn o gred
A chartre 'n ymbledio am roddiad y Kymro
Da i dylen i dilio rai dylied.

Ond ydiw ddigwilidd pregethwyr y coedydd
Ir pulpyd wa beynydd ai gyreffydd ai gri
Heb fedry llythyren or pedair arhigien
A bod am i gogen yw grogi.

Un arall mor wrol ai wrthie mor nerthol
A hede 'n gorfforol i'r nefol nenn
Wrth dreio 'r ddyskeidieth ar ysbryd ar bregeth
Fe gwympe'r kydymeth i'r dommen.

Mi a welais barch hefyd i arglwydd o fowyd
Ne feistr cylfyddyd mae'n benyd i'r beidd
A heiddiw mwy enwog i'w henwi Cariadog
Na marchog wych arfog och wir feirdd.

Mae rhai apostolion 'n rhodio 'n athrawon
I ynill dyskyblion or dynion a dro
Ond i bod nhw ar guoedd at ynill y nefoedd
'N waeth i gweithredoedd wrth rodio.

Trethu 'r tylodion ar gweiniaid ar gweddwon
Ag arbed y kryfion rag ofn i gyd
Os tryan ni thale, fo ddygid a fedde
Os ynte ai lluddie, foi lleddyd.

Ni chawn i meawn llandre chwech 'n unlle
O achos y ffyddie 'n dadle 'r un dôn
Na byddon yn kredu rhuw grefydd or neulltu
A hynu am 'r Iessu 'n ymryson.

Mae rhai 'n yr henffydd a rhai o bob krefydd
A rhai or fordd newydd drwy i gilidd 'n glir
Ag fellu i maen rhynghyn 'n dottio kyffredyn
Ni wyr undyn i'w galyn pwu a goelir.

Ffarwel fy ngymdeithion am brodyr un galon
Chwchwi sydd 'n ffyddlon ag inion i gyd
Byddwch gysyrol a byth 'n obeithol
Daw nefol lon gwrol a'n gweryd.

A byddwch ddiarswyd i'r ffydd eich bydyddiwyd
A gwiliwch gaû broffwyd ich llygru
A sicir na ysglusoch gydwybod dda ynoch
Llei deloch rowch drosoch 'r Iessu.

VII.

## Y Letani Newydd.

Yr hen letani ni chawn beynydd
Na llyfr gweddi 'r Eglwysydd
Heiddiw mynwn un o newydd
*Libera nos domine.*

Rhag pregethwr o gelfyddyd
Ni wypo beth i bo yn i ddoydyd
Rhag nerth y Committee hefyd
*Libera nos domine.*

Rhag y Twrk ag rhag y Scottiad
Rhag y Pab ar Presbiteriad
A llywodraeth Independiad
*Libera nos domine.*

Rhag offeiriad a ryfela
Rhag y milwr a bregetha
Rhag cyndynrwydd merch smala
*Libera nos domine.*

Rhag addysgy lladd brenhinoedd
Rhag hyfforddi'r peth ar gyhoedd
Rhag trais milwyr ai byddinoedd
*Libera nos domine.*

Rhag prynu tir Eglwisi tirion
Ag arian gwyr a las yn wirion
A llofruddio aer y Goron
*Libera nos domine.*

Rhag yn llowydd an cam dreisiai
Rhag y Parlament ni allai
Wnethur gronyn mal i dylai
*Libera nos domine.*

Rhag yr ystys a briodo
Ar offeiriad glwth a gladdo
Heb un gair oi ben a ddwetto
*Libera nos domine.*

Rhag amodau llwf anudon
Rhag y didrangc drethi mowrion
I wyr Scotland ag i'r Werddon
*Libera nos domine.*

Rhag rhoi yn drygau an rhagreithiad
At raglinieth Duw ucheldad
A halogi'r gyffredin-wlad
*Libera nos domine.*

Rhag y brawd ai glistiau sythion
A gras y bwyd oi ddychmygion
Howel slodiwr ai gyfeillion
*Libera nos domine.*

Rhag pob dynion di-gydwybod
A gymerant arnynt wybod
Rhai ni wnelant bris o bechod
*Libera nos domine.*

Rhag rhoi cyflog hir i fradwyr
Rhag gwhilion yn ben glwadwyr
Rhag llif tornant a rhwysc gwrengwyr
*Libera nos domine.*

Rhag y dyn a fo anghredadwy
I drefn Eglwys ganmoladwy
Rhag priodas heb un fodrwy
*Libera nos domine.*

Rhag henawgwr godinebys
Rhag rhai meddwon rhy eiddigys
Rhag gwen-heithwyr cenfigenys
*Libera nos domine.*

Rhag llywodraeth nerth y cleddau
Rhag trethoedd gwragedd y tafarnau
Rhag rhoi'r gyfreth oll yn ddarnau
*Libera nos domine.*

Rhag distyru dydd 'r Arglwydd
Na gair Duw na gwyr cyfarwydd
Rhag pob pechod a chyndynrwydd
*Libera nos domine.*

Rhag y cythrel ai holl weission
Rhag hir ddilyn drygau mowrion
Rhag caledrwydd yn y galon
*Libera nos domine.*

## VIII.

### [Cwyn rhyw Eglwyswr.]

Gwae nyni or gyfnewid sy arnom,
Cann hawddfyd i'r byd a welsom.
Gwae ni o'n bod meawn byd anhowddgar
Gwyn i fyd sy dann y ddayar.

Arglwydd Iesu beth o'r matter
Gwrthod bedydd, gwadu'r pader
Gwadu'r Gredo ar gorchmynion
Gwayth i bychedd na'r Iddewon.

Cablu geirie Duw drwy ddisigil,
Llygru'r srythyr, wrestio'r 'fengil,
Tynny pobol oi credinieth
Llenwi'r byd o gau athrawieth.

Gwlltio llygad cyro pulpyd
Cael a wnaethon newydd ysbryd
Heury anwir yn i trowsedd
Twyso pawb i amryfusedd.

Lladd, lledratta, speilio'r gweinied
Poini'r cyfion, perchi'r diried
Llwyr ddychanu Duw drwy ddirmig
Rhwygo'r Eglwys yn ddrylliedig.

Rhoddi'r pen yn lle'r gloren
A rhoi'r gynffon ar y talken
Tro a dadtro pob ychydig
Coigi yn fawr bob gradd fonheddig.

Gwydd a Chrudd ag Eurach gloywlyd
Tailiwr, Panwr, Piniwr hefyd
Rhoddi'r gwaela i riw o ddynnion
Ar yr Eglwys yn Athrawon.

Casglu milwyr rhwystro'r Cymmyn
Llwyr gilgwthio Christ oddiwrthyn
Wele, wele, gwnan i hamcan
Fo ddaw dial am y cyfan.

Teyru maen' fod yspryd ganthyn
. . . . i dysgu i hyn o destyn
Dyna beth i rwi yn i coilio
Yspryd Sattan sydd iw temptio.

IX.

## Ymddiddan rhwng Rowndyn a Merch.

GAN MR. PRICE.

*Rowndyn.* Nos daf i chwi'r ewig oreuwych i lliw
Gofynwn iwch gwestiwn pe gwyddwn mai gwiw
Adolwg f'anwylyd a ddweydyd di'r gwir
A geri di sawdwr o Barlament tir?

*Y Ferch.* Gofyn a gawsoch ac atteb a gewch
Os coelio'r gwirionedd uniawnwedd a wnewch
Na chara, na fynna er coweth y shir
Mae'n well gan i o lawer y glan Gablîr.

*Rowndyn.* Gwir galon gwawr olau, bŷn alawnt ei modd
Dod immi well cysur clyw nolur yn rhodd
Tro atta i dy feddwl a newid dy ffydd
Ac itti'n y diwedd dim 'difar ni bydd.

*Y Ferch.* Edifar rwi'n ammau cyn nemawr a ddaw
Mi rodia beth etto cyn rhwymo fy llaw
Ewch ymaith bodlonwch a choeliwch im gair
Un Rowndyn yn f'einioes ni fynna mynn Mair.

*Rowndyn.* Aro, tro i wrando na ddyro fyth lw
Ond dangos pa achos su rhyngot a nhw

Ni welais un etto ac atteb mor frau
Pam fenaid mor greylon yr wyt yn naccau.

*Y Ferch.* Gwenwyn a gwenieth yn odieth a wnewch
A dal yn ddiogel eich gafel pan gewch
A dangos dau wyneb ir dynion su ffol
A thwyllo ffol ddynes a ddenoch ich ôl.

*Rowndyn.* Pam rwyt ti fy seren yn siarad mor ddwys
I roeddwn yn tybied y telit dy bwys
A thithe sydd etto yn atteb yn groes
Ac am fy hoff gariad trugaredd nid oes.

*Y Ferch.* Nid ydiw f'attebion yn groes nac yn gras
Ond traethu fy mwriad, er cariad, er cas
Mae pawb ich adnabod yn agos y mhell
Fel dyma'r gwir heddyw, ni haeddech ddim gwell.

*Rowndyn.* Dy sidan, dy sattan yn siwttiau it a gei
Os dowad im calyn a'm coelio inau a wnei
Cei weled pob ffasiwn hoffusol ar sydd
A byw yn gowaithogion a digon bob dydd.

*Y Ferch.* Oth sidan ath sattan ansitiol it fost
Rhai eraill ai prynodd drwy lawer o gost
Ac nid ar eich meder, ond madws rhoi tro
Im gwneythyr i'n baenes, ple bynnag i bo.

*Rowndyn.* Mae nghyfraith f'anwylyd yn alawnt yn ty
Ple bynnag i delwn mi fyddwn yn hû
Os mentri fy nghowled a nghalyn lliw'r dydd
Ac arnat gwawr aur frig dim diffig ni bydd.

*Y Ferch.* Eich coelio nis galla eich caru nis gwna
Nid oes arna eisiau na dillad na da

Ond gras gan Dduw heddyw, a heddwch i'r
wlad
Eich moddion nis myna i mendio fy stad.

*Rowndyn.* Ffarwel it dros ennyd, mae'n anodd dy droi
I galyn gwr gweddol rwi'n gweled na ddoi
Ond cofia di'n gwbwl a gwybydd nad hir
Dos ymaith i ymofyn am ryw Gablîr.

*Y Ferch.* Ffarwel i chwi Rowndied, del arnoch chwi
drai
Pe dweydwn i Rebels ni byddau arna i fai
Dymynwn na bytho yn troedio mor tir
Un Rowndyn y Nghymru na Pharlamanttir.

## X.

## Ymddiddan rhwng yr ha a'r gaua.

*Ne egwan ddameg yn amser Crowmwel*
*neu ar riw fyd terfysglyd arall.*

Am fi'n goddau towydd blin
Yn wyneb drycin gormod
Ac yn dweydyd rhyngo ar bryn
Nid ydiw hyn ond cafod.

Mi glown riw beth dan yr iâ
Fel petfae 'r gaia eger
Yn dweyd yn chwerw'n, arw, heb nwy
*Gauaf.* Hi a beru yn hwy o lawer.

*Haf.* Ni wna i ronyn coel i ti
Mi ges fy nhrochi yn barod
Mae dy linyn yn rhu dynn
Nid ydiw hyn ond cafod.

*Gauaf.* Na chamgymer felly langc
Nid elli ddiangc rhagddi
Fo all yr ifangc farw yn hen
Cyn gweled diben arni.

*Haf.* Nid oes yn dy gwmwl tew
Ond gwynt a rhew a rhyndod
Fo ddaw etto haul ar fryn
Nid ydiw hyn ond cafod.

[*Gauaf.* Mae'r haul wedi colli i wres
Di wyddost hanes hwnw
Fo wnaeth Ionawr glodfawr glau
Nad gwiw coffau moi henw.

*Haf.* Er i Ionawr megis blaidd
Wasgary'r praidd i ddifrod
Fe ddaw Mai dros donau llyn
Nid ydiw hyn ond cafod.]

*Gauaf.* Ti elli rynnu yn aros hâ
Wrth ddal yr eitha ar wndwn
Dos i'r llwyn su'n llawn o goed
Na bu erioed moi ffasiwn.

[*Haf.* Gwae fi gofio yn fy nydd
Lygru gwinwydd hynod
Ni ddo'i blith myieri . . .
Nid ydiw hyn ond cafod.

*Gauaf.* Mae'r winwdden yn ddi fri
Ai changen wedi gwyfo
A phwy a wyr y dau hi byth
Na wna moth nyth dan hono.]

*Haf.* Pa le mae'r gangen irwen oedd
Yn rhoddi i filoedd gyscod

A blanasau 'r Iesu gwynn
Nid ydiw hyn ond cafod.

*Gauaf.* Honno a dorrwyd yn y bôn,
Ni wiw mor son am dani
Ni cheir wrth ei throi ai thrin
Ond sirrion rawnwin arni.

*Haf.* Fo dŵf etto oddiwrth y gwraidd
Ffrwythlonaidd iraidd aerod
A thann y rhain dof inau i'r glynn
Nid ydiw hyn ond cafod.

*Gauaf.* Mae fy mwyall etto ar dân
I ddifa'r mân gangheni
Siawns a fydd o fewn y fro
Un pricc a dalo ei losci.

*Haf.* Fo ddaw etto ar ôl y rhain
Rai i chwnnu'r drain a'r sorod
Ac i gadw'r derw a'r ynn
Nid ydiw hyn ond cafod.

*Gauaf.* Er dy ynfydrwydd di ath fryd
Fo fynn y byd ei ragor
Meddwl cyn dy ffaelio yn gwitt
Pa beth sydd ffitt i'r tymor.

*Haf.* Ffarwel auaf mawr ei dân
Mi gadwaf lan gydwybod
Dan obaithio yn Iesu gwyn
Nad ydiw hyn ond cafod.

Os daw gofyn pwy ai gwnaeth
Pa ham i gwaeth pwy ai gwnelo
Dyn yn gwrando ar yr hâ
A'r gaua yn ymgomio.

## NODIADAU.

### CÂN I.

Codwyd y gân hon o'r *Addit. MSS.* 14878, f. 90[b], yn yr Amgueddfa Brydeinig. Ysgrifenwyd y llawysgrif yn y flwyddyn 1692, gan Thomas Evans (Thomas ab Ifan), o Dre'r Bryn, Llangrallo, Sir Forganwg. Ceir amryw o lawysgrifau y Thomas Evans hwn yn Llyfrgell Llanofer, ac ym mhlith y *Banks MSS.* Gwneir defnydd helaeth o honynt gan Iolo Morganwg yn y *Myfyrian Archæology* ac yn yr *Iolo MSS.*

Cyfansoddwyd y gân gan y Parchedig Thomas Jones, person Llanfair, yn Sir Fynwy. Ni wyddom ddim o'i hanes, ond efe oedd awdwr cân o groesaw i'r Bibl Cymraeg cyntaf. Argraffwyd hono yn *Cymru Fydd*, 1889, tud. 104-6. Rhaid gwahaniaethu rhyngddo a'r Parch. David Jones, person Llanfair Dyffryn Clwyd, bardd o gryn fri yn y mesurau caethion, a chopïwr dyfal o hen lawysgrifau Cymraeg. Yn anffodus, y mae ymylon y dail wedi braenu a rhwygo ymaith mewn rhai manau yn llawysgrif yr Amgueddfa, ac felly y mae'r *text* yn anmherffaith. Dengys y gân fod yr hen offeiriad yn Brotestant selog, a rhydd syniad lled gywir o deimladau y dosbarth canol ar achlysur y *Spanish Armada.*

### II.

Ceir hon yn *Phillipps' MSS.*, 12453, tud. 175, yn Llyfrgell Rydd Caerdydd. Ni ddywedir pwy oedd yr awdwr neu'r awdures. Ysgrifenwyd hi rywbryd yn

ystod y Rhyfel Cartrefol, tua'r flwyddyn 1643-4 yn ol pob tebyg. Perthynai y llawysgrif i deulu Stymllyn, Sir Gaernarfon. Dengys y gân hon, ac eraill sydd yn dilyn, fod teimladau digofus iawn yn ffynnu rhwng y ddwy blaid, y Roundiaid a'r Cafaliers, yn Ngogledd Cymru.

III.

Awdwr hon oedd yr enwog Rowland Vychan o Gaer Gai (1590-1667). Ceir hanes manwl am dano yn *Enwogion y Ffydd* (cyf. I.), *Traethodau Llenyddol Dr. Edwards*, *Hanes Llenyddiaeth* Ashton (21-29). Yr oedd yn enwog fel bardd a chyfieithydd, ond ychydig o'i weithiau barddonol sydd wedi eu cyhoeddi. Ymladdodd o blaid y Brenin yn y Rhyfel Cartrefol, ond carcharwyd ef yn Nghaerlleon, a llosgwyd ei gartref, Caer Gai. Rhyddhawyd ef o'r carchar trwy ddylanwad yr Ynad Glyn, o Gastell Penarlag. Ysgrifenwyd y gân yn niwedd 1646 neu yn nechreu 1647, fel yr ymddengys oddiwrth y penillion diweddaf, lle y cyfeirir at yr ymrafaelion rhwng y Scottiaid a'r Saeson, ymgais O'Neill i gymeryd Dulyn, a'r terfysgoedd yn Llundain rhwng yr Independiaid a'r Presbyteriaid. Codwyd y gân o'r *Addit.* 14974, f. 51.

Llinell 4.—"Barth," llawr y gegin; cym. *Oriau Eraill* Ceiriog, tud. 120.

Ll. 15, 16.—Cyfeiriad at Edmwnd Meyrick, Ucheldref, Sir Feirionydd, A.S. o Ebrill hyd Ragfyr, 1660; neu at Edmwnd Meyrick, Garthlwyd, Uchel Sirydd dros Sir Feirionydd, yn 1633. Yr oedd efe wedi ochri gyda'r blaid wrth-frenhinol.

Ll. 20.—"Rhaglaw Castell Harlech," sef William Owen.

Ll. 22, 23.—"Weddw lan y Rhiw Goch." Mae yn debyg taw Margaret, merch Hugh Nannau, o Nannau, a gweddw Robert Lloyd, y Rhiw Goch, Trawsfynydd, oedd y "weddw lan."

Ll. 24.—"Cwm y Moch." Cwm rhwng Trawsfynydd a Harlech. Yr oedd y gath yn y fan hyn yn croesi ardal lle yr oedd dylanwad Morgan Llwyd o Wynedd yn gryf.

Ll. 36.—"A thros y llech i'r felin." Ai Melin Eisingrug feddylir?

Ll. 48.—"William Owen." William Owen, Rhaglaw Castell Harlech, yn ddiau, oedd hwn. Yr oedd yn fab i John Owen ap Owen ap Robert, o Fodsilin, sir Gaernarfon, ac i Elen ei wraig, aeres Brogyntyn a Chleneneu, ac felly yn frawd i'r enwog Syr John Owen, o Gleneneu, arweinydd y blaid frenhinol yn Ngogledd Cymru.

Ll. 56.—"Robin Goch," sef Robert Ffoulkes.

## IV.

Cymerwyd y gerdd hon o'r *Addit. MSS.* 14891, f. 7, a cheir hi hefyd yn *Addit. MSS.* 14874, f. 131b. John Griffith, o Blas Llanddyfnan, yn Sir Fôn, oedd awdwr y gân hon a'r un nesaf, ond yn anffodus, ni wyddys fawr am dano. Ceir llawer o'i garolau, ei englynion, a'i gywyddau yn mhlith llawysgrifau yr Amgueddfa. Ymddengys iddo gael addysg dda, canys cyfansodda farddoniaeth yn y Gymraeg, y Saesonaeg, a'r Lladin gyda'r un rhwyddineb. Yr oedd yn dirfeddianwr, yn Eglwyswr, ac yn bleidiwr selog i'r Brenin Siarl I. Yr oedd hefyd yn gâr i Rowland Vychan o Gaer Gai, Robert Vaughan, Hengwrt, Dr. Edward Wynn, ac eraill o lenorion yr oes. Mae yn debyg fod y Mr. Bwlclai y cyfeirir atto yn gefnder i'w dad, ac felly yn fath o ewythr iddo yntau.

Cynrychiolir y teulu heddyw gan *Lady* Vivian, ac y mae'r dreftadaeth yn parhau yn ei meddiant. Gwelir oddiwrth y gân hon, a'r un sydd yn dilyn, fod John Gruffydd yn Frenhinwr pybyr.

V.

Codwyd y gân hon o lawysgrif Lewis Morris o Fôn, yn *Addit. MSS.* 14938. Yr ydym wedi ei hargraffu air-yn-ngair fel y mae yn y llawysgrif, er fod ynddi rhai ymadroddion isel a dichwaeth. Ond, pe gadewid allan y darnau hyn, anafid y gân, a chan fod cylchrediad cyfyngedig i'r llyfr, barnasom yn ddoeth ei gadael hi yn hollol fel ei cyfansoddwyd. Cŵyn hen ysgwier gwledig wrth weled ei weision a'i weithwyr yn codi eu penau ac yn myn'd yn drech nag ef yw'r gân. Nid ydym yn credu fod y cymeriadau a ddarlunir ynddi yn rhai lleol: er esiampl, cawn fod John Griffith wedi cyfansoddi penill ar un Huson, cobleryn un-llygeidiog a enillodd ffafr Oliver Cromwell.

"The cobler made a knight and baron too,
Proves fortune to be blind advancing so;
Yet wonder not to see the Cobler climb,
His little awl become a sword in time."

Nid oes ddadl fod milwyr Cromwell a'i bleidwyr yn aflonyddu llawer ar yr hen dirfeddianwr. Yn 1650 cawn ef yn ysgrifenu yr englyn canlynol i nifer o filwyr a darient ym Môn ar eu ffordd i'r Iwerddon:—

"Awel fain dwyrain dirion—a ddelo
I Ddylun i'w danfon,
Cynifer o'r cenafon
Ac yn eu plith, melldith Môn."

Y mae amryw o'r ymadroddion a geir yn y gân yn dywyll i Ddeheuwyr, ond yr ydym yn cynyg eglurhad ar rai o honynt:—

Penill 5.—"Syth"="*size*," "*starch*."

Penill 7.—"Fe drwsia hwrdd cyn mynd i ffwrdd;" h.y., fe wna gryn dipyn.

Pen. 9.—"A gweirie gwman crochan hen." Cwman yw ochr crochan lle mae'r chwydd ynddo.

Pen. 10.—"Corn siol." Feallai taw "corn sïol," h.y., corn canu, feddylir.

Pen. 11.—"Y dyn a'r nod coch mwyn." Defnyddir "nod coch" hyd heddyw at farcio defaid, ond nis gwn ai rhywbeth tebyg oedd y "nod coch" hwn.

Pen. 14.—Gwneir y cyhuddiad hyd heddyw fod y cowper, neu'r "cwper," fel y gelwir ef yn y Deheudir, yn lladratta "ffynn o goed" at wneyd ei gylchau.

Pen. 25.—"Y saer cerrig grysbas goch;" h.y., *red doublet*. Oes yma gyfeiriad at ryw wisg neillduol a arferid gan y seiri cerryg?

Pen. 27.—Y mae'n amlwg fod rhyw wall yn y bumed linell yn y penill hwn. Feallai y dylid darllen, "Yn awr mae'r slâf yn feistr brâf."

Pen. 29.—Yr oedd y crythor yn yr amseroedd hyn, ac am flynyddau maith ar ol hyn, yn un o'r prif gymeriadau mewn ardal, yn enwedig ar adegau llawen, megys gwyl a phriodas. Fe gofir yn y cysylltiad hwn am gân Hugh Morris i ofyn feiol tros William Robert, cyf. I., tud. 304.

## VI.

Cymerwyd y gân hon o *Phillipps' MSS.*, 12453. Cyfleir hi fan yma fel esiampl o syniadau gwerinwr oedd yn bleidiol i'r Brenin. Rhaid cofio fod y mwyafrif

mawr ym mhlith y Cymry yn hollol anfoddog dan lywodraeth Cromwell; ac er fod pregethwyr ac arweinwyr y Roundiaid yn ddynion rhagorol, yn nhyb rhai pobl, etto yng ngolwg y werin, nid oeddent yn ddim amgen nag offerynau yn nwylaw y Saeson i amddifadu y Cymry o'u breintiau gwladol a chrefyddol.

## VII.

Wele un arall o'r *Phillipps' MSS.* 12453. Ceir dwy neu dair o ganeuon cyffelyb yn y Saesonaeg: cymharer, er esiampl, *Merry Drollerie*, 1661, Ebsworth edition, p. 241; *Rump Songs*—vol. I., p. 160; vol. II., pp. 115, 183; a *Political Ballads* (W. W. Wilkins), vol. I., p. 23. Yn wir, y mae'r gân hon yn rhyw ledgyfieithiad o'r "New Litany" a geir yn y *Political Ballads*:—

"From an extempore prayer and a godly ditty,
From the churlish government of a city,
From the power of a country committee,
Libera nos, Domine.

From the Turk, the Pope, and the Scottish nation,
From being govern'd by proclamation,
And from an old Protestant, quite out of fashion,
Libera nos, Domine.

From Irish rebels and Welsh hubbub-men,
From Independents and their tub-men,
From Sheriff's bailiffs and their club-men,
Libera nos, Domine."

## VIII.

Dyma gerdd etto o'r *Phillipps' MSS.* 12453. Gellir dweyd yr un peth am hon ag a ddywedwyd am Rhif VI.

## IX.

Codwyd y gân hon o hen lawysgrif ym meddiant y golygydd, a ysgrifenwyd gan Margaret Davies, o'r Goetre, Dolgellau, yn y flwyddyn 1738. Awdwr y gân, yn ol y llawysgrif, oedd un Mr. Price, ond yn anffodus, ni ddywedir pwy oedd y gwr hwnw.

## X.

Wele gân arall o lyfr Margaret Davies, ond ychwanegwyd penillion 6, 7, 9 a 10 allan o lawysgrif arall, sef *Addit. MSS.* 14987, yn yr Amgueddfa Brydeinig.